E. L. Parry

Y Farw wedi ei chodi yn fyw
Atebydd
Anerchiad
Beth ydyw yr Efengyl
Beth yw Mormoniaeth
Y Gloriau
Gau Brophwydi
Hanau
Cwcw y Don
Amddiffyniad y Saint
Adolygiad -

# Y FARW WEDI EI CHYFODI YN FYW:

NEU'R

# HEN GREFYDD NEWYDD.

# TRAETHAWD

YN DANGOS

## ANGHYFNEWIDIOLDEB TEYRNAS DDUW.

**GAN CAPT. D. JONES.**

---

"CANYS MYFI YR ARGLWYDD NI'M NEWIDIR," &c.—Malachi.

" A rhai yn wir a osododd Duw yn yr Eglwys; yn gyntaf APOSTOLION, YR ail PROPHWYDI, yn drydydd athrawon, yna GWYRTHIAU: wedi hynny DONIAU I IACHAU, cynorthwyau, llywodraethau, RHYWIOGAETHAU TAFODAU."—Paul.

"Eithr pe bai i ni, neu i Angel o'r nef Efengylu i chwi amgen, na'r hyn a Efengylasom i chwi bydded ANATHEMA."—Paul etto.

"Ac efe (Crist) a esgynodd i'r uchelder ac a roddes roddion i ddynion."

"Ac EFE a roddes rai yn APOSTOLION, a rhai yn BROPHWYDI," &c.—Paul fyth.

"Dymunaf ar bob Cymro a wêl y traethodyn hwn ei ddarllen yn bwyllog a diduedd, ai farnu (nid cyn ond WEDI ei gymharu) wrth y Gyfraith a'r dystiolaeth, wrth yr hon y bernir ni oll cyn hir; ond ni foddlonaf, i Dduwinyddion y byd eistedd mewn barn arnaf, am na osodwyd hwy yn farnwyr."—YR AWDWR.

"Profwch bob peth, a deliwch yr hyn sydd dda."—medd Paul.

"Y neb a attebo beth CYN EI GLYWED, ffolineb a chywilydd fydd iddo."—Solomon,

---

**TRAETHAWD, Rhif. 1af.**

---

GWRECSAM:

ARGRAFFWYD GAN WILLIAM BAYLEY, HEOL-ESTYN.

1845.

# RHAGYMADRODD.

UN o wrthrychau godidoccaf y bŷd, ïe, prif addurn y greadigaeth, yw, *Meddwl annibynol*, rhôdd y *nef* yw hon i *ddynion*, a'r hynottaf o'i holl roddion : yr hwn ni feiddia feddwl drosto ei hun, nid yw ddynol, a'r hwn nad ymddwyn yn gyferbyniol, iw'r rhagrithiwr gwaethaf o'r hîl ddynol! Ychydig, mewn cydmariaeth sydd yn meddu ar yr anian auraidd hon, am nad ydynt yn gwybod ei gwerth; ond yr wyf fi, er yr unig UN o hîl Gomer ar a welais yn y wlad) yn honi fy hawl, nid yn unig i gredu, ond hefyd i amlygu yr athrawiaeth a osodir allan yn y traethawd hwn, ïe mae'n ddyledswydd arbenig arnaf gyhoeddi 'r hyn a gredaf yn wirioneddau dwyfol; pêd esgeuluswn hyny ni byddwn ddieuog ger bron fy marnwr. GWIRIONEDD yw'm cleddyf, a gŵn, mae'r, HWN YDWYF." Sy'n cynal fy neheulaw: ei waith Ef yw, am hyny nid ofnaf beth a wnêl dyn i mi!

EI AIR EF, yw'r unig reol anffaeledig a hyny heb un esponiad *ffaeledig* arno." A dymunaf ar y darllenydd, gydmaru, yn onest, a diduedd y pethau hyn, (nid wrth Gyffes yr hên dadau,) ond wrth y Gyfraith ar dystiolaeth, oni ddywedant yn ôl y gair hwn, hynny sydd am nad oes oleuni ynddynt. Pa un a ydyw y pethau hyn felly ? Sydd holiad pwysig iawn, ac a ddylai gael ei atteb, nid *wedi* ond *cyn* eu cymharu a'r drych cywir; canys y neb a attebo beth cyn ei glywed ffolineb a chywilydd fydd iddo." medd Sol. Dywed Paul, "Profwch pob peth, deliwch yr hyn sydd dda," Na fydded i neb ddyfod i benderfyniad byrbwyll am yr athrawiaeth hon, o herwydd ei bod yn ymddangos yn *newydd* a *dieithr*, canys yr hynaf un o bob athrawiaeth yw; a sicr yw na bydd ddieithr i neb yn yr ail-fyd, os bydd yn hwn.

Cyfrifaf yr hwn a'i *prawf* yn anysgrythyrol, (mewn yspryd addas,) yn *ffrund* penaf, ïe yn wladgarwr dâ; a rhwymaf fy hun i alw y cyfeiliornad yn ol, (wedi ei BROFI felly, y Bibl yn unig, fel mae'n ysgrifenedig, yn rheol) yn y modd mwyaf cyhoeddus. Ond, o'r ochr arall, os condemnia neb ef cyn ei chwilio, gan roddi rhwystrau ar ei ffordd, efe a brawf ei hun yn annoeth ac annhêg, yn wrthwynebwr y gwirionedd; ie yn elyn yw genedl ei hun; a bydded Solomon yn farnwr arno.

Na farner yr athrawiaeth hon yn ôl yr ystoriau disail, a'r mil ond un o chwedlau celwyddog, sydd eisoes wedi gorlifo'r wlad yn erbyn yr enw hwn; canys gallaf *brofi pob* un a glywais etto, yn gelwyddog a disail; a rhoddi hollol foddlonrwydd i bob dyn, a addef un math o brawf.

Ni wna un dyn egwyddorol feio ar fy iaith, os nad yw mor ramadegol; oherwydd na fuom ymhlith Cymry nemawr er yn fachgen; ond wedi bod er's dros ddeunaw mlynedd, bron o hyd, ymysg iethoedd ereill, lle na chlyw'n air o honi; yn enwedig am y saith mlynedd diweddaf, ni sŵniodd un Cymro dyrtyr fwyn fy ngwlad am awr yn fy nglyst; ac ni allai dim llai na chariad at fy ngwlad, a dymuniad mawr i'm cyd-genedl gael y gwir; ie fel y mae yn yr Iesu, fy nghymell, dan y fath anfanteision; i gynyg iddynt yr egwyddorion hyn, gan wybod eu bod yn wahanol i bob athrawiaeth sydd yn y wlad! Ond gwell genyf anturio ar fy nyledswydd, ar gost pob peth, hyd yn nod enw da (yr hwn a gyfrifaf yn well nac aur coeth lawer) ie, os bydd raid rhoddi bywyd hefyd yn offrwm gwirfoddol dros y gwirionedd, nac anturio ar gost cydwybod effro i ŵyddfod ei hawdwr, i gyfarfod un Cymro, wedi celu y pethau hyn oddiwrtho!!

Gwrecsam, Ebrill 4, 1845.

# GAU-BROPHWYDI.

"CANYS CYFYD GAU-GRISTIAU, A GAU-BROPHWYDI, AC A RODDANT ARWYDDION MAWRION A RHYFEDDODAU, HYD ONI THWYLLANT, PE BYDDAI BOSIBL, IE, YR ETHOLEDIGION,"—*Mat.* xxiv, 24.

YR achos mwyaf neillduol a'n cymhella i sylwi ar y geiriau hyn yn awr ydyw, oherwydd fod, nid yn unig pregethwyr o'r pwlpudau, ond hefyd awduron ac aelodau yr amrywiol bleidiau crefyddol drwy'r wlad, yn cyhuddo Saint y Dyddiau Diweddaf o fod yn euog o'r cymmeriad hwn. "Onid yw Crist wedi ein rhybyddio," meddant, "y deuai *gau-brophwydi?* a dyma hwy eisoes wedi dyfod." Pan ofynir iddynt pa fodd y gwyddant mai y Saint ydynt, dywedant, "Wel, oherwydd mai hwy yn unig o holl bobl y byd sy'n proffesu bod yn brophwydi yn y dyddiau hyn." Yn ol y resymeg hon, rhaid fod pob un a broffesa fod yn brophwyd, yn yr oes hon, o anghenrhaid yn *au*-brophwyd. Os felly, gwna yr un resymeg bob un o'r prophwydi a fu erioed, o'r lleiaf hyd y Prophwyd mawr ei hun, yn *au*-brophwydi, yn gystal â'r Saint, oherwydd eu bod hwy oll yn eu dydd wedi proffesu yr un peth! Beth yw hyn yn well nâ deistiaeth, neu o leiaf y fath ynfyta o ffolineb a thwyll-resymeg! Cyssonach o lawer a fyddai yr haeriad hwn o enau anffyddwyr proffesedig, nac o eneuau y rhai sy'n proffesu eu bod yn credu yn y cyn-brophwydi. Nid yw y Saint yn au-brophwydi oherwydd fod poblogrwydd yr oes hon yn rhoddi yr enw hwnw arnynt, mwy nag yr oedd crefyddwyr, Rabbis, a Phariseaid yr oes apostolaidd yn profi ein Blaenor mawr a'i brophwydi yn *aubrophwydi*, wrth waeddi hyny o'r pwlpudau, a chyhoeddi fel o newyddiaduron y wlad, mai gau-brophwydi oeddent. Nid ydym yn cofio am un gwir brophwyd a fu ar ein daear ni, a'r nad oedd yr un teulu yn gwaeddi yn unllef nerth eu pen, "Gau-brophwyd," ar ei ol, a thrwy hyny godi y fath erlidigaeth arno nes ei ferthyru, efallai, yn hwyr neu hwyrach; a phan dduwiolaf y prophwyd, uwchaf y gwaeddent hwythau "gau-brophwyd" arno, nes ar ol ei farw, credai eu plant mai *gwir* oedd y prophwyd hwnw a laddodd eu tadau am un *gau.*

Mae o bwys i bawb ddeall, pa un ai y Saint, ai eu cyhuddwyr, ynte pwy, yw y *gau-brophwydi*, fel eu gwareder rhagddynt. Cymmeryd ein harwain gan y cyfryw fyddai colli enaid; condemnio y Saint am y cyfryw heb eu profi yn au-brophwydi, drwy arholiad teg a manwl, fyddai colli enaid y ffordd hòno, fel y gwnelai y cyn-oesoedd a wrthodent genadwri prophwydi Duw, am au-brophwydi; canys ni anfonodd Duw brophwyd i'r byd erioed, a'r nad oedd iachawdwriaeth yr oes hòno yn dibynu ar eu hufydd-dod i'w genadwri. Os nyni yw y gau-brophwydi, dymunem wybod hyny. Yr ydym yn barod i dreial teg ar y pwnc; ac os gellir dwyn cymmaint ag un ysgrythyr i'n profi felly, da fyddai genym addef yn onest, gadael y gau yn y fan, a cheisio y gwir; canys pa reswm fyddai i ddyn lynu wrth dwyll er colli ei enaid? Pob peth a rydd dyn am ei enaid: felly rhoddwn

PRIS CEINIOG.]

ninnau ein proffes, credoau, ffurfiau, a phob peth, ïe, hyd y nod ein bywydau, os bydd raid, er cael y gwir; a dysgwyliwn yn rhesymol i'n cyhuddwyr neidio i'r pen arall o'r glorian, er gweled uwchben pwy, mewn difrif, yr ysgrifenir y "Mene, tekel, upharsin." Y rheol neu y dafol sy'n deg o bob tu, ydyw yr *even balances* hyny ag y pwysai Mab Duw â hwynt, sef—"Wrth eu ffrwythau yr adnabyddwch hwynt." Darllener Mat. vii, 15—21. "Ymogelwch rhag gau brophwydi." Gwelir wrth y gwisgoedd defaid am danynt mai proffeswyr a fyddent, ac nid gwawdwyr. Dyma y Saint yn neidio i un pen i'r glorian, gan ddywedyd, "Gwae chwi pan ddywedo y byd yn dda am danoch, canys felly y dywedent hwy am y gau-brophwydi o'ch blaen chwi." Deuwch, chwithau, holl dduwinyddion parchus, holl ddoctoriaid bonęddigaidd, a'r holl bregethwyr sy'n cael eich cyfarch â phlygiad gwegil gan bob gwrryw, ac y plyga pob benyw lin wrth eich cwrdd ar yr heol; y rhai ydych yn rhodio ar hyd *imported carpets* i'r lleoedd uchaf yn eich synagogau gwychion, eich penelinoedd ar glystogau o sidan, *satin*, *velvet*, o wahanol liwiau. Hawdd yw gwaeddi "gau-brophwydi," wedi dringo mor uchel â hyna; hawdd gan eich hudolion gredu fod y du yn wyn, a'r gwir yn gau, pan y dêl o'r fath le santaidd â hyna. Ond beth a ddywed Barnwr yr holl ddaear, yr hwn a rodiai ar hyd ein daear ni, heb le i roi ei ben i lawr, na theitl gwell nâ "gau-brophwyd" o'r eisteddleoedd uchel yna? Pwy sy'n llenwi y cymmeriad yna, tybied? Gŵyr ein cyhuddwyr nad y Saint! Etto, ebe Crist, "Pe buasech chwi o'r byd, yna y byd a garasai ei eiddo ei hun; ond myfi a'ch cymmerais chwi allan o'r byd, am hyny y byd a'ch casâ chwi," a gallasai ychwanegu, "ac a'ch galwant yn gau-brophwydi." Mae y dafol o'n hochr yma etto. Ydyw, mae y ffrwythau a ddygir gan ein cyhuddwyr yn gyffredinol, yn profi nad y Saint yw y gau-brophwydi, yn ol yr hyn a ddywed Crist, "Y neb a fyddo fyw yn gyfiawn yn Nghrist Iesu a erlidir." Dynion drwg sy'n erlid, a rhai gwell nâ hwy eu hunain a erlidiant bob amser. Nid y gwir oedd yn erlid ac yn difenwi y gau-brophwydi yn amser yr apostolion; ond, o'r ochr arall yn hollol yr oedd; ac onid yw yr un achos yn dwyn yr un effaith yn awr?

Etto, taflwn un arall o bomgranadau y gau-brophwydi i'r glorian, sef eu gweithredoedd, "Ac a roddant arwyddion mawrion a rhyfeddodau," i'r dyben o dwyllo. Yr unig bwysau a roddant i'n herbyn yn y glorian hon, yw haeru nad ydyw y Saint yn dangos dim arwyddion, nac yn gwneyd dim rhyfeddodau. Wel, ynte, pa fodd y gallant lenwi y cymmeriad o gau-brophwydi, yn ol geiriau Crist? canys yr oedd y gau-brophwydi i *wneuthur* y naill a'r llall, ïe, "*a roddant arwyddion mawrion.*" Addefa ein cyhuddwyr ormod yma i wasanaethu eu hochr hwy—maent yma yn profi *nad* y Saint yw y gau-brophwydi; a chan iddynt addef mor deg, chwiliwn pwy ydynt, ynte. "O, nid ní," meddant, "oherwydd nid ydym ni yn credu mewn 'arwyddion a rhyfeddodau' yn yr oes hon." Aroswch dipyn, eich ffrwythau a'ch profant, a'ch geiriau a'ch barna. Onid chwychwi sy'n ceisio arwyddion gan y Saint, ac yn begian arnynt wneyd gwyrth o hyd, gan addaw y credwch mai gwir brophwydi ydynt os gwnant un wyrth fach i chwi? Ac oni welwch mai y *gau*, ac nid y *gwir*, a roddai arwyddion!

Os nad ydych yn profi eich hunain yn au-brophwydi, amlwg eich bod yn rhoddi y gert o flaen y ceffyl, ïe, o chwith yn hollol! Beth! "farnwyr yr oes," "bugeiliaid praïdd yr Iesu," wedi sicrhau mai gau-brophwydi yw y Saint, a rhybyddio eu defaid i beidio a'n gwrandaw; ac wedi'r cwbl, yn dweyd y credant yn hollol groes i'r hyn a wyddant yn sicr, os cânt ond un wyrth fach! ac yna y perswadiant eu praidd i adael eu corlanau hwy, a myned at y "*bleiddiaid*." Dyma wyrth o'u heiddo eu hunain o'r diwedd! Dyma i'w praidd "arwyddion" o'r dall yn tywys y dall i gorlan y "bleiddiaid," ïe, dyma ni wedi dyfod o hyd i'r "gau-brophwydi sy'n gwneuthur rhyfeddodau er twyllo" eu praidd, druain!! Pwyser yn fanwl; dacw *au* yn y naill ben i'r glorian, a *gwir* brophwyd yn y pen arall. Pa un o'r ddau sydd yn gofyn am wyrth? Nid y *gwir* gan y *gau* erioed, er profi y gau yn wir; ond y *gau* gan y *gwir*, bob amser! Pwy yw'r trymaf yn y glorian hon etto? "Wrth eu ffrwythau" fyth! Ond, meddant, "y mae eich proffes o'ch gallu gwyrthiol chwi yn efelychu y 'gau-brophwydi' yn fwy nâ nyni sydd yn gwadu y fath allu yn hollol." I'r glorian â hyn etto. Nid yw y Saint erioed wedi proffesu "gallu gwyrthiol" o honynt eu hunain, ond yn unig eu bod yn weision i'r Duw hwnw a addefwch chwi yn anghyfnewidiol, ïe, yr hwn yr addefwch ei fod wedi gwneyd gwyrthiau yn y cyn-oesoedd, ac os *anghyfnewidiol*, a'u gwna etto, ond cael yr un fath offerynau, drwy yr arferiad â'r unrhyw foddion yn ol ei addewid. Onid dyma *broffes* pob gwir brophwyd? Yma etto mae eich *proffes* chwi yn wahanol i'r gwir, a ninnau yr un fath â hwy. A ddichon yr un *broffes* brofi Saint y Dyddiau Diweddaf yn *au*, ag a addefir yn brofion cedyrn o *wirionedd* Saint y dyddiau gynt? Enghraifft o *logic* "gau-brophwydi" yw hyn. Nid dyben gweision Duw yn rhoddi arwyddion, na dyben Duw ychwaith, oedd er profi eu bod yn wir brophwydi, oherwydd ni buasai felly ond un ffordd i brofi y gau a'r gwir hefyd. Dyben y gau yn rhoddi arwyddion fyddai er cael gan ddynion gredu mai gwir oeddynt; ond y ffordd y gwnai y gwir brophwydi oedd, traddodi cenadwri eu Duw—"pregethu Crist croeshoeliedig," &c., gan gyfeirio at reswm eu gwrandawwyr; ac *wedi* iddynt gredu ac ufyddhau y genadwri, derbynient hwythau yr Ysbryd Glân, yr hwn oedd yn nerthol weithio ynddynt a thrwyddynt, i'w galluogi i wneuthur rhyfeddodau mawrion, ond oll "er llesâd ac adeiladaeth i'r eglwys," ac nid er argyhoeddi y byd. Nid yw yr ychydig eithriadau a wnaeth Duw i hyn, yn rhoddi hawl i neb o'i weision eithro oddiwrth y rheol ddwyfol, sef—"A'r arwyddion hyn a *ganlynant* y credinwyr," a gofyn iddynt *rayflaenu*, fel y gwna "gau-brophwydi." Nid oes bosibl twyllo yn y naill fodd; mae y llall, sef yr arwyddion gau, yn bwrpasol i dwyllo.

Pe dywedasai Crist, Ymogelwch rhag *prophwydi*, yna buasai rhyw esgusawd dros ddedfryd galed ein barnwyr arnom. Ond eu gwaith hwy yn unig yw cyssylltu y tair llythyren arall, sef *gau*, wrth y Saint? gwnant hyn hefyd fel y gwnai pob "gau-brophwydi" â'r gwir, sef heb gynnyg un math o brawf o hono. Ac heriwn holl bobl y byd, i brofi fod y Saint yn teilyngu y cymmeriad yna. Onid yw gwaith Crist yn gosod y gair *gau*, yn profi y byddai *gwir* brophwydi? neu ynte, onid yw yn air gormodol o enau yr hwn a ddywedodd, "Am bob gair

segur a ddywedo dynion, y rhoddant gyfrif yn y farn." Ystyriwn fod hyna yn gasgliad naturiol.

Nid y ni sydd i brofi yr amser y cyfeiria Crist ato; ond profa ein cyhuddwyr mai yr oes hon ydyw, drwy haeru mai nyni yw y "gau-brophwydi" oedd i ddyfod! ac er mwyn cyfleusdra, a'u dala yn eu rhwyd eu hunain, cymmerwn eu hamseryddiad hwy yn ganiataol. Ac felly rhaid iddynt addef cyflawniad yr adnodau blaenorol sydd mewn cyssylltiad, yn enwedig adn. 14, "A'r efengyl HON am y deyrnas a bregethir drwy'r holl fyd er TYSTIOLAETH i'r holl genedloedd, ac YNA Y DAW Y DIWEDD." Nid rhaid ond chwilio pa fath efengyl oedd hòno y cyfeiria ati, a'i chymharu â'r holl opiniynau a'r crêdoau a bregethir gan holl grefyddwyr yr oes hon, er gweled nad atynt hwy y cyfeiriai Crist yma. Efengyl yn cael ei chadarnhau gan ddoniau ysbrydol yn wyrthiol, oedd Crist a'i apostolion yn ei phregethu, yr hon oedd "yn allu Duw er iechydwriaeth," nid mewn gair yn unig, ond mewn nerth, ac mewn sicrwydd mawr yn yr Ysbryd Glân." "Efengylau" heb ddoniau ysbrydol, na'u heisieu, yw "efengylau" sectyddol yr oes hon; heb ddim *sicrwydd*, ond *ammheuaeth* ac ofnau hyd wely angeu; ac "Ysbryd Glân" yn eu tywys wrth eu teimladau, nid "i undeb y ffydd," ond i rai cannoedd o wahanol ffyddiau a chredoau! Efengyl yn dysgu ei hufyddion i weddio dros y rhai wnel niwed iddynt, ac a'u herlidiant, oedd efengyl Crist; a'r "HON" y cyfeiria efe ati a gaiff ei phregethu yn y dyddiau y dywed ein cyhudd-wyr y deuai y gau-brophwydi, sef y Saint, ebe hwy. Ond, "efengyl-au" yn dysgu eu gwrandawwyr i erlid pawb a'r nad ydynt yn perthyn i'w plaid hwy, i alw y Saint yn "gau-brophwydi," a'u dysgu i floeddio hyny arnynt o'r pwlpudau, ac ar hyd yr heolydd, yw "efengylau" duwinyddion yr oes hon. "Byddwch awyddus i brophwydo"—"deis-yfwch ddoniau ysbrydol, ond yn hytrach fel y prophwydoch," oedd efengyl Paul. "Gwaeddwch gau-brophwydi ar bwy bynag a broffesa ysbryd y brophwydoliaeth," yw efengylau yr oes hon. Hollol groes i'w gilydd, onide? Gwelir ynte, yn ol eu hamseryddiad hwy a geir-wiredd Iesu Grist, fod rhyw brophwyd i ddod a phregethu "yr efengyl HON," sef efengyl â'i harwyddion gyda hi, fel yr "HON" a bregethai Crist ei hun. Ac yn ol eu haddefiad hwy, yn awr y preg-ethid hi, ac y byddai "*gau* brophwydi" yn gwaeddi "Gau-brophwydi" ar ei phregethwyr! Diolchwn iddynt am yr addefiad hwn, ond rhyfedd-wn yn fawr pa fodd y gallant gyflawni prophwydoliaethau sydd mor eglur, a phrofi eu hunain yn "au-brophwydi" yn ngwyneb y fath oleuni! Nid gwiw iddynt ymguddio o'r arholiad yn eu pwlpudau, a gwaeddi "gau-brophwydi" ar y gwir mwyach: y mae dynion rhesymol yn dechreu deall pa fodd i *handlo* y glorian eu hunain. "Dylai y gau-brophwydi sy'n byw mewn tai gwydr beidio dechreu taflu cerryg at ereill." Gwelir eu bod yn rhy brin o bwysau yn y glorian o hyd. Y maent wedi addef fod prophwydi fel y Saint i ddyfod yn yr oes *hon*, ac i bregethu "*yr efengyl* HON" a bregetha'r Saint, ac y caent yr un driniaeth ac a gânt hwy! Ac y mae ein cyhuddwyr heb ddwyn un prawf etto i'n herbyn.

Gan fod yn ddyledus i'r cyhoedd wybod pwy yw y gau-brophwydi, a'u hadnabod, rhoddwn holl bregethwyr yr oes sy'n gwadu bodoliaeth

gwir brophwydi, na'r anghen am danynt, yn y glorian etto, a cheir gweled beth yw eu pwysau hwynt! Pwy, a pheth a broffesant hwy i fod yn mhlith cedyrn yr oes? Atebwn, i ni eu clywed yn crochlefain o'r pwlpudau, "Gau-brophwydi yw y Seintiau, ond nyni ydym weinidogion efengyl Crist, cenadon dros Dduw, tystion yr Iesu, &c." Pwyser hyn yn fanwl, a gwelir ei fod yn *contradiction in terms*, yn anmhosiblrwydd i fod yn wir! Beth, dynion yn haeru ar yr un anadliad eu bod yn dystion dros Grist, ac yn gwadu ysbryd y brophwydoliaeth! Dyred di â'th glorian yn mlaen. Ioan, er pwyso y dywediadau rhyfedd hyn! Dad. xix. 10, "Canys tystiolaeth yr Iesu ydyw ysbryd y brophwydoliaeth." Dyred dithau Paul. "Eithr ni all neb ddywedyd yr Arglwydd Iesu, eithr trwy yr Ysbryd Glân." Beth a ddywed Crist? "Hyn yw y bywyd tragywyddol, iddynt dy *adnabod* di yr unig wir Dduw, a'r hwn a anfonaist ti, Iesu Grist." Dywed dithau Pedr, pa fodd y dywedaist ti mai Iesu "yw y Crist, Mab y Duw byw?" Ai trwy weled ei wyrthiau, ei arwyddion, a'i ryfeddodau? Nage. "Nid cig a gwaed a ddadguddiodd hyn i ti, ond fy Nhad, yr hwn sydd yn y nefoedd," sef drwy ddadguddiad uniongyrchol drwy yr Ysbryd Glân, fel y dywed Paul uchod, na allai neb ddywedyd hyny un ffordd arall, ond drwy yr Ysbryd Glân, yr hwn, ebe Ioan, 'yw tystiolaeth yr Iesu,' yr hon yw 'ysbryd y brophwydoliaeth.' Ac felly pe gofynwn, pa fodd y dichon dynion fod yn meddu yr Ysbryd Glân, neu yn genadon dros Grist, dan wadu ysbryd y brophwydoliaeth? Fe'm siomid pe ceid dynion o ddoethineb yn eu plith hwy oll i ateb! Ac etto, mor afresymol i ddynion haeru eu bod yn gyfryw nes y gallont ateb! A phed atebent yn iawn, byddai raid iddynt ddod yn Formoniaid, neu Saint, fel ninnau, ac addef efengyl yn dwyn dadguddiad, ac ysbryd y brophwydoliaeth, neu fod heb yr un. Ac felly yn y naill ben i'r glorian yn ogystal a'r llall, profent eu hunain yn *gau-brophwydi.*

Onid at yr amser hyn, a'r crefyddau hyn y cyfeiriai Paul; 2 Tim. iv, 3. "Canys daw yr amser pryd na ddyoddefant athrawiaeth iachus [fel yr efengyl '*hon*,' ysbryd y brophwydoliaeth a'r doniau ysbrydol]; eithr yn ol eu chwantau eu hunain y pentyrant iddynt eu hunain athrawon [nid wedi eu hanfon gan Dduw drwy ddadguddiad, &c., megys cynt], gan fod eu clustiau yn merwino;" adn. 4. "Ac oddiwrth y gwirionedd [a bregethai Crist a'i apostolion] y troant ymaith eu clustiau [gan waeddi gau-brophwydi, &c.], ac at chwedlau y troant."

Ni wyddom am ddim tebycach i'r "chwedlau" nâ'r ystoriau, y deongliadau priod, a'r dychymmygion a bregethant o'r pwlpudau, dan yr enw "efengyl." Ond amlwg yw fod Paul yn pwyso y dafol hon i'r llawr o blaid y Saint etto, ac yn codi meddwl ein gwrthwynebwyr i'w llygaid eu hunain, nes y rhaid eu bod yn ddall oni welant eu hunain mewn drych, ac edifarhau, a dychwelyd i'r iawn. Fe welodd Pedr y rhai hyn hefyd drwy ysbryd y brophwydoliaeth. Gwel eu hanes yn gywir yn 2 Pedr 11, 1—"Eithr bu hefyd gau-brophwydi yn mhlith y bobl [gynt], megys ag y bydd gau-athrawon yn eich plith chwithau [yn yr amser dyfodol]; y rhai yn ddirgel a ddygant i mewn heresiau dinystriol [megys cyfnewid rhai, a gwadu ereill, o ordinhadau eglwys Crist, sef y doniau, &c.], a chan wadu yr Arglwydd, yr hwn a'u pryn-

odd hwynt," &c. Gwaedda ein cyhuddwyr fuddugoliaeth ar hyn, efallai, am nad ydynt hwy yn gwadu yr Arglwydd, ond yn gwaeddi, Arglwydd, Arglwydd, o hyd. Ond rhoddwn y ffrwyth hyn etto yn y glorian, er gweled pa un ai ar eu hysgall hwy, ynte ein ffigysbren ni, y tyfa. Dichon dynion wadu yr Arglwydd, mewn ffaith, yn groes i'w proffes, yr hyn yw y fath waethaf a mwyaf rhagrithiol o wadu, oherwydd y mae yn cynnwys twyll a chelwydd. "Yr hwn sy'n dweyd ei fod yn caru Duw, ac heb gadw ei orchymynion ef, o'r celwydd y mae, a'r gwirionedd nid yw ynddo ef." Prawf Crist y modd y mae hyd y nod y rhai hyny a waeddant, "Arglwydd, Arglwydd," y rhai a ddysgwyliant eu cymmeradwyo am eu hanil-eiriau a'u rhith o hir weddiau, yn gwadu yr Arglwydd, Mat. 10, 40—"Y neb sydd yn eich derbyn chwi sydd yn fy nerbyn i; a'r neb sydd yn fy nerbyn i sydd yn derbyn yr hwn a'm danfonodd i." Ac o'r ochr arall, y neb sydd yn gwrthod ei weision anfonedig ef, gan eu galw yn "gau-brophwydi," sydd yn ei wrthod, neu ei wadu ef, yr hwn a'u danfonodd, sef "yn gwadu yr Arglwydd." Felly y gwadodd yr ysgrifenyddion a'r Phairseaid, a holl sectau yr oes hòno, ac y croeshoeliasant Arglwydd y bywyd, am "gau-brophwyd," ac y dewiswyd llofrudd yn ei le, er eu holl ymffrost o'u crefydd a'u proffes o dduwioldeb! Ac felly y mae crefyddwyr traddodiadol pob oes a wrthodant anfonedigion yr Arglwydd, yn "gwadu yr Arglwydd," er nad oes un oes yn fwy felly nâ'n hoes ni, debygem.

Ond wrth eu ffrwythau desgrifia Pedr hwynt yn mhellach yn adn. 2—"A *llawer* a ganlynant eu dystryw hwynt [yma etto y mae y Saint yn ddigon o bwysau, oherwydd gwaedda ein herlidwyr mai "ychydig," "gwehilion," a rhyw nifer fach iawn ydym, ac yn lleihau o hyd, meddant, ond ymffrostiant fod y lliaws gyda hwy. "A gredodd neb o'r penaethiaid yn y Saint?" meddant. "O na, ysgubion y byd, a sorod pob dim ydynt." O'r goreu, ynte; addefwch mai chwychwi yw y gwyr a eilw Pedr yn gau-athrawon yma], oherwydd y rhai y ceblir ffordd y gwirionedd." Pwy sydd yn achosi i ffordd y gwirionedd gael ei chablu? Ai y Saint, drwy rodio ynddi, ynte y cannoedd a broffesant rodio ynddi, ac etto yn groes i'w gilydd? Nage, yn ddiau, nid y Saint, ond sectau yr oes; canys ymresyma pob dyn call, oddiwrth eu gwaith hwy yn addef nad oedd ond un ffordd iawn gynt, ond un Iachawdwr, un Bibl, un Arglwydd, un ffydd, un bedydd, ac un Duw; nad oes ond un o honynt hwythau oll yn iawn yn awr ynte. Ac etto, y mae yn dasg mor anorphen i'r gonest ei egwyddor gael allan fod hyd y nod un o honynt yn iawn, ac yn ol yr ysgrythyrau, nes y mae miloedd yn rhoddi i fyny y gorchwyl mewn anobaith. Ac nid wyf yn ammau nad oes cannoedd, os nad miloedd, o'n brodyr unwaed yn Nghymru yn awr, wedi cael eu diflasu, a'u gorfodi i chwilio am gyssondeb a rheswm o fewn Deistiaeth ac Atheistiaeth, yr hyn ni cheir yn holl groes-gyfundraethau darniog yr oes. Sicr iawn fod dynion yn achosi cablu y Bibl, a'r grefydd ddwyfol a gynnwysa, drwy ei broffesu ar air, a'i wadu ar eu gweithredoedd. Na thwylled neb chwi: nid oes neb yn casglu ffigys oddiar ddrain, na grawnwin oddiar ysgall. Ond o'r ochr arall, y mae degau o'r dynion hyny ag oeddynt yn rhy resymol i allu bod yn sectariaid, ond wedi bod yn ddeistiaid am flynyddau, yn awr, ar ol clywed y Saint yn pregethu ffordd y gwirionedd yn ol yr ysgrythyrau, yn credu, yn ufyddhau iddi, wedi cael gwybodaeth o'r gwirionedd, ac yn llawenhau yn Nuw eu hiechydwriaeth; ac er eu bod yn cael gair da gan grefyddwyr yr oes y pryd hyny, gwaeddant "gau-brophwydi" ar eu hol hwythau yn awr. Felly, gwelir nad

oherwydd y Saint, ond y sectariaid, "y ceblir ffordd y gwirionedd." Etto, yn yr adn. nesaf, desgrifia Pedr ein cyhuddwyr mor gywrain a phe buasai wedi treulio ei oes yn eu plith. Adn. 3. "Ac mewn cybydd-dod, trwy *chwedlau gwneuthur*, [eu credoäu, a'u rheolau eu hunain] y gwnant [sef, y gau-athrawon,] *farsiandiaeth* o honoch." Pwy sy'n gwneuthur marsiandiaeth o'r efengyl, ai y Saint sydd yn ei phregethu yn rhad, heb arian, ac heb werth, ond yn myned "heb god nac ysgrepan i'r daith," fel yr elai y pysgotwyr hyny â'r unrhyw efengyl gynt. Ynte esgobion, archesgobion, ficeriaid, curadon, doctoriaid y cyflogau mawrion, a phregethwyr cyflogedig yr enwadau am chwech, wyth, neu ddeg punt y mis, wedi eu sicrhau dan feichiau yn flaenorol; ac ereill teithiol sy'n pregethu tair pregeth y dydd am o hanner coron i goron yr un, a'u costau?

Deuwch yn mlaen, gyfeillion, mae y Saint yn y glorian! Ai nyni, ynte eln cyhuddwyr, sy'n gwneyd marsiandiaeth o eneidiau ein gwrandawwyr, a chrefft o grefydd Crist, yr hon a orchymynodd efe ei phregethu i'r tylodion yn rhad? O na, mae y cyhuddiad hwn mor anmhriodol i'r Saint a'r cyhuddiad o 'au-brophwydi,' a gwelir mai y rhai sydd ddyfnaf yn y ffos sy'n cyhuddo y dieuog etto, rhag ofn y cânt rai o'r ceiniogau sy'n ei llygad dynu hwy. Pe darfyddai y *tocyns*, buan y darfyddai y pregethau mewn llawer man, a'r neb a anmheuo, anfonant eu 'hathrawon,' fel yr â y Saint ar eu costau eu hunain, a buan y ceffid ffeithiau i brofi pwy yw y 'gau-athrawon!' Yn yr adnodau canlynol, noda yr Apostol ffrwythau gau-athrawon y dyddiau diweddaf yn debyg i au-athrawon yr hen fyd, yn llefain 'gau-brophwyd,' &c. ar ol Noah gyfiawn. Trigolion Sodom a Gomora ar Lot, ydynt yn cablu y pethau "ni wyddant oddiwrthynt." "Ac a dderbyniant gyflog anghyfiawnder, a hwy yn cyfrif moethau beunydd yn hyfrydwch. Brychau a meflau ydynt yn ymddigrifo yn eu twyll eu hunain, gan wledda gyda chwi." "Yn llithio eneidiau anwadal." "Wedi gadael y ffordd uniawn [sef efengyl Crist] hwy a aethant ar gyfeiliorn, [bawb yn ol eu credoau eu hunain] gan ganlyn ffordd Balaam, mab Bozor, yr hwn a garodd wobr anghyfiawnder." Beth sydd yn fwy anghyfiawn na chodi tâl a'r eu gwrandawwyr am gablu a gwyrdroi ordinhadau Duw, gweithrediadau ei Ysbryd Glân, a galw ei weision ef yn 'gau-brophwydi,' yn dwyllwyr, yn "sataniaid," &c., a rhybuddio y bobl i beidio a gwrando efengyl Crist, yr hon a bregethir ganddynt? Onid yw hyn yn anghyfiawn tuag at eneidiau, ac at feddiannau dynion, er mwyn gwobr? Ai tybied fod Balaam erioed wedi cael gwobr mor anghyfiawn a hyn? Gwrthododd hyd y nod y dyn drwg hwnw, ymwerthu i wneuthur fel y rhai hyn. "Canys, gan ddywedyd chwyddedig eiriau gorwagedd, y maent hwy, trwy chwantau y cnawd, a thrythyllwch, yn llithio y rhai a ddiangasai yn gwbl oddiwrth y rhai sydd yn byw a'r gyfeiliorn, (sef y sectariaid.) Nid anfynych yr ymwelant â'r rhai a ddiangasant oddiwrthynt i'r ffordd uniawn, gan draethu pob camgyhuddiadau a glywsant o ben i ben, a newyddiaduron llygredig yr oes yn erbyn y Saint, yn lle *profi* (os oes ganddynt,) gyfeiliornad croes i'r bibl. Ac yna ymarllwysant eu holl *anathemas* melldithlawn uwch eu penau yn eu gwendid, i geisio eu dychrynu. A mwy nag unwaith ysgrifenwyd llythyrau at y Saint yn saith gwaeth na *bulls* y Pab, yn dweyd eu bod wedi pechu yn anfaddeuol, drwy 'brofi pob peth, a dal yr hyn sydd dda,' fel y dywed yr ysgrythyr am i bawb wneyd. Ond y bugeiliaid hyn a ddywedant y byddai y cyfryw yn y "*tân a brwmstan, yn herwi tàn dîn lucifer, gwnaed a fynont*! &c. Mor fanwl y gwelodd Pedr eu castiau, "yn ceisio llithio yn ol y rhai a ddiangasent," o'u cyfeiliornadau dinystriol, unwaith. Da fyddai iddynt gofio geiriau Iesu Grist, "Gwell fuasai iddynt pe rhoddasid maen melin o amgylch eu gwddf, a'u suddo yn eigion y môr, nac iddynt rwystro un o'r rhai bychain hyn."

Yn awr, anwyl frodyr a chwiorydd yn Nghrist, wedi chwilio pa amser yr oedd ysbryd y brophwydoliaeth drwy Grist a'i weision yn cyfeirio ato, ynghyd â pha nodau, arwyddion, a ffrwythau, a ddygai y gau-brophwydi a'r gau-athrawon ag y rhybyddiant ni o'u dyfodiad, yr ydym yn diolch i Dduw Dad, a'n Harglwydd Iesu Grist, nad yw yr un o'r nodau hyny, mewn un modd, yn dynodi "Saint y Dyddiau Diweddaf." Ond gallwn ni, yn anad pawb, orfoleddu yn yr arholiad a ddengys ein bod ni yn parhau yn yr athrawiaeth hòno a draddodwyd i ni gan Dduw, ein bod wedi ufyddhau o galon i ammodau y mabwysiad, ac wedi derbyn Ysbryd y mabwysiad, trwy yr hwn yr ydym yn llefain, Abba Dad. Ymdrechwn, ynte, er ein cael yn deilwng i fyned i mewn i'w orphwysfa ef. Gan ein bod wedi cael y fath fraint annhraethol ag ufyddhau i'r efengyl dragwyddol, yr hon sy'n dwyn bywyd ac anllygredigaeth i oleuni, ac yn cael bod yn deilwng i dderbyn doniau yr Ysbryd Glân, er ein perffeithio, a'n haddasu i ogoniant ein Harglwydd, pa fath ddynion a ddylem ni fod mewn santaidd ymarweddiad a duwioldeb, yn dysgwyl am, ac yn brysio at, ddyfodiad dydd Duw, yn yr hwn y nefoedd gan losgi a ymollyngant, a'r defnyddiau gan wir wres a doddant? Eithr nefoedd newydd, a daear newydd, yr ydym ni, yn ol ei addewid ef, yn eu dysgwyl, yn y rhai y mae cyfiawnder yn cartrefu.

Gwnawn ein goreu ar rodio yn addas i'r alwedigaeth nefol i'r hon y'n galwyd. Byddwn ddifrycheulyd oddiwrth y byd, rhag troi y cloff allan o'r ffordd; a gweddiwn dros y rhai a wnel niwed i ni, ac a'n galwant yn *au-brophwydi*, gan dosturio wrthynt tra bo bosibl, a'u hesgusodi dan y fantell o anwybodaeth. Pan waeddant "gau-brophwydi" arnoch, os gallwch eu cael at y maen prawf, sef y Bibl, a'u pwyso yn y glorian gywir, sef wrth eu ffrwythau, ymdrechwch ddangos iddynt mewn ysbryd addfwyn, eu bod fel Dafydd gynt, yn rhoddi y ddedfryd arnynt eu hunain yn eu hanwybodaeth. Gan fod yn wyliadwrus na chydymffurfioch â'r rhai sydd yn proffesu rhith duwioldeb, ac yn gwadu ei grym hi, cofiwch gynghor Judas, "Y bydd yn yr amseroedd diweddaf watwarwyr yn cerdded yn ol eu chwantau annuwiol eu hunain. Y rhai hyn yw y rhai sy'n eu *didoli* eu hunain [nid anffyddwyr, ond *didoli* eu hunain yn sectau amrywiol] yn anianol, heb fod *yr Ysbryd* ganddynt." Nid fod heb *ysbryd,* ond heb *yr Ysbryd Glân* yn ei ddylanwadau dwyfol, a'i ddoniau ysbrydol; canys nid arweinia yr Ysbryd Glân neb i *ddidoli* oddiwrth eglwys Crist, neu oddiwrth y ffydd hòno a roddwyd unwaith i'r saint; canys un Ysbryd Duw sydd, ac y mae hwnw yn tywys i *undeb* y ffydd, ac nid i *ddidoli* neu *ymranu.* Ymgedwch oddiwrth y cyfryw. Chwi a ellwch brofi yr ysbrydion ai o Dduw y maent. Profwch hwynt wrth Ysbryd Duw ynte, fel na'ch llithier gan ysbrydion cyfeiliornus, wedi i chwi unwaith ddianc oddiar y cyfryw. "Eithr chwychwi, anwylyd, gan eich adeiladu eich hunain yn eich santeiddiaf ffydd, a gweddio yn yr Ysbryd Glân, ymgedwch yn nghariad Duw, ac yn nghwlwm tangnefedd, gan ddal eich gafael yn y gobaith a osodwyd o'ch blaen, fel y derbynioch y goron anniflanedig a roddwyd i gadw i chwi y rhai ydych yn cyd-ddyeddef â'n Harglwydd Iesu Grist, pan ddel efe i'w ogoneddu yn ei saint, oherwydd i'n tystiolaeth ni, [yn hytrach nâ'r gau-brophwydi,] gael ei chredu yn eich plith chwi." A'r Duw tragwyddol, eich Tad nefol, a'ch cadwo yn ddiogel rhag pob bleiddiaid, gau-athrawon, gau-brophwydi, a rhag pob drwg, hyd oni ddelo, yw ein taer weddi dros ei holl Saint. Amen.

---

MERTHYR-TYDFIL: CYHOEDDWYD AC AR WERTH GAN D. JONES.

ARGRAFFWD GAN JOHN JONES, RHYDYBONT.

